# Stori Kayla

**Taflen senario gyda chymorth**

MAE'CH DATA CHI'N CYFRIF

1. Darllenwch y senario isod ac amlygwch unrhyw fanylion a allai fod yn torri'r Cod Plant yn eich barn chi.

## Stori Kayla

Mae Kayla yn 14 oed ac yn cofrestru ar gyfer cyfrif ar Skroll, llwyfan newydd yn y cyfryngau cymdeithasol mae ei ffrindiau'n ei ddefnyddio. I gofrestru mae'n rhoi ei henw, ei hoedran, ei rhywedd a'i chyfeiriad ebost.

Ar y ffordd i'r ysgol mae hi'n uwchlwytho hunlun ac yn tagio ei ffrindiau i roi gwybod bod ganddi hi gyfrif Skroll erbyn hyn. Wrth i’r llun uwchlwytho, mae Kayla’n sylwi bod y llun wedi'i dagio'n awtomatig gyda'i lleoliad hi. Erbyn iddi gyrraedd yr ysgol, mae llawer o bobl wedi hoffi’r llun, gan gynnwys pobl nad yw hi'n eu nabod.

Ar ôl ysgol, mae Kayla yn dilyn ei hoff ddylanwadwr, sy’n cael ei thalu am bartneriaeth newydd gyda brand treinars. Mae Kayla yn clicio ar y llun, sy’n mynd â hi i wefan y brand.

Dros y dyddiau nesaf mae Kayla’n cael llawer o hysbysebion o hyd am dreinars tebyg.

Mae angen i Kayla wneud darn mawr o waith ysgol, felly mae hi'n penderfynu cymryd seibiant o Skroll. Y noson honno mae'n cael hysbysiad gan yr ap sy’n dweud, ‘Dan ni’n gweld dy eisiau di ar Skroll. Edrycha beth mae dy ffrindiau wedi'i bostio heddiw!'.

Mae hi'n clicio ar bolisi preifatrwydd yr ap i ddeall sut mae'r ap yn defnyddio’i data personol ond mae'n hir ac yn gymhleth iawn, felly mae hi'n rhoi'r gorau iddi.

# Stori Kayla

Taflen senario gyda chymorth

MAE'CH DATA CHI'N CYFRIF

## 2. Parwch y manylion sy'n torri'r Cod Plant â'r atebion pwrpasol.

Mae Kayla wedi cael hysbysiad sy'n dweud bod Skroll yn gweld ei heisiau a'i bod hi wedi colli negeseuon gan ei ffrindiau



Mae lluniau Kayla wedi cael eu hoffi gan lawer o bobl nad yw hi'n eu nabod



Mae'r polisi preifatrwydd yn hir iawn ac yn gymhleth felly mae Kayla yn rhoi'r gorau i'w ddarllen



Mae llun Kayla wedi'i dagio'n awtomatig gyda'i lleoliad hi



Mae Kayla'n cael llwyth o hysbysebion treinars o hyd



- Dylai'r traciwr lleoliad fod wedi'i droi i ffwrdd
- Dylai proffil Kayla fod yn breifat yn ddiofyn
- Dylai proffilio fod wedi'i droi i ffwrdd ac felly ddylai Kayla ddim bod yn derbyn hysbysebion wedi'u targedu ar sail ei gweithgarwch ar-lein
- Dylai proffilio fod wedi'i droi i ffwrdd ac felly ddylai Kayla ddim bod yn derbyn hysbysiadau ar sail ei gweithgarwch ar-lein
- Dylai polisïau preifatrwydd gael eu hysgrifennu mewn iaith syml ar gyfer cynulleidfa ifanc



ico. Information Commissioner's Office